# Data Personol Jay

Taflen waith gynradd

## Allwch chi weld **pedwar darn** o ddata personol mae Jay yn eu rhoi i ffwrdd?

Tanlinellwch nhw, isod.



Ar brynhawn dydd Sadwrn gwlyb, dyma Jay yn gofyn i'w mam a allai hi fynd ar-lein i wneud ymchwil ar gyfer prosiect ysgol am chwaraeon.

Cytunodd ei mam, ac estynnodd y gliniadur. Cyn dechrau, gosododd ei statws cyfryngau cymdeithasol ar 'Prysur'.

Roedd Jay eisiau gwneud prosiect am bêl-droed merched ac roedd eisiau gwybod a oedd clybiau yn yr ardal. Aeth ar injan chwilio a theipio 'clwb pêl-droed merched lleol'.

Daeth hi o hyd i wefan y tîm ieuenctid lleol. Cofrestrodd i gael negeseuon ebost, drwy lenwi ffurflen oedd yn gofyn am ei henw, ei dyddiad geni a'i chyfeiriad ebost.

Roedd Jay am weld ble yn union roedd eu cae, felly chwiliodd am y cyfeiriad ar-lein i weld a allai hi gerdded yno o'r tŷ gyda'i mam.